# Cynllun cyhoeddi enghreifftiol

## Deddf Rhyddid Gwybodaeth

Paratowyd a chymeradwywyd y cynllun cyhoeddi enghreifftiol hwn gan y Comisiynydd Gwybodaeth. Gall gael ei fabwysiadu heb ei addasu gan unrhyw awdurdod cyhoeddus heb ei gymeradwyo ymhellach a bydd yn ddilys hyd yr hysbysir yn wahanol.

Mae'r cynllun cyhoeddi hwn yn ymrwymo awdurdod i sicrhau bod gwybodaeth ar gael i'r cyhoedd fel rhan o'i weithgareddau busnes arferol. Mae'r wybodaeth a drafodir yn cael ei chynnwys yn y dosbarthiadau o wybodaeth a grybwyllir isod, pan fydd y wybodaeth yma yn cael ei chadw gan yr awdurdod. Rhoddir cymorth ychwanegol i ddiffinio'r dosbarthiadau hyn mewn llawlyfrau cyfarwyddyd penodol i sectorau a gyhoeddir gan y Comisiynydd Gwybodaeth.

Mae'r cynllun yn ymrwymo awdurdod i:

- Gyhoeddi yn rhagweithiol neu sicrhau bod gwybodaeth ar gael fel rhan arferol o'i batrwm, gan gynnwys gwybodaeth amgylcheddol, sy'n cael ei chadw gan yr awdurdod ac sy'n disgyn i'r dosbarthiadau isod.
- Nodi'r wybodaeth sy'n cael ei chadw gan yr awdurdod ac sy'n disgyn i'r dosbarthiadau isod.
- Gyhoeddi yn rhagweithiol neu sicrhau bod gwybodaeth ar gael fel rhan arferol o'i batrwm yn unol â'r datganiadau sydd yn y cynllun hwn.
- Gynhyrchu a chyhoeddi'r dulliau y bydd y wybodaeth benodol ar gael fel arfer fel y gall aelodau o'r cyhoedd ei hadnabod a'i defnyddio yn rhwydd.
- Adolygu a diweddaru'r wybodaeth y mae'r awdurdod yn sicrhau ei bod ar gael dan y cynllun hwn yn gyson.
- Gynhyrchu rhestr brisiau o unrhyw ffioedd a godir am gael mynediad at wybodaeth sydd ar gael yn rhagweithiol.
- Sicrhau bod y cynllun cyhoeddi hwn ar gael i'r cyhoedd.
- Gyhoeddi unrhyw set o ddata a gedwir gan yr awdurdod y gofynnwyd amdani, ac unrhyw fersiynau wedi eu diweddaru y mae'n eu cadw, oni bai bod yr awdurdod yn fodlon nad yw'n briodol gwneud hynny; cyhoeddi'r set data, pan fydd yn rhesymol o ymarferol, ar ffurf electronig y gellir ei ailddefnyddio; ac, os bydd unrhyw wybodaeth yn y set data yn waith hawlfraint perthnasol ac mai'r awdurdod cyhoeddus

yw'r unig berchennog, sicrhau bod y wybodaeth ar gael i'w hailddefnyddio dan amodau'r Rheoliadau Ailddefnyddio Gwybodaeth y Sector Cyhoeddus 2015, os ydynt yn berthnasol, ac fel arall dan amodau adran 19 Deddf Rhyddid Gwybodaeth.
Diffinnir 'set data' yn adran 11(5) Deddf Rhyddid Gwybodaeth. Diffinnir 'gwaith hawlfraint perthnasol' yn adran 19(8) o'r Ddeddf honno.

# Dosbarthiadau gwybodaeth

**Pwy ydym ni a'r hyn yr ydym yn ei wneud.**
Gwybodaeth am y sefydliad, lleoliadau a chysylltiadau, llywodraethiant cyfansoddiadol a chyfreithiol.

**Beth yr ydym yn ei wario a sut yr ydym yn ei wario.**
Gwybodaeth ariannol yn ymwneud ag incwm a ragwelir ac incwm gwirioneddol a gwariant, tendro, caffael a chontractau.

**Beth yw ein blaenoriaethau a sut yr ydym yn gwneud.**
Gwybodaeth am strategaeth a pherfformiad, cynlluniau, asesiadau, arolygiadau ac adolygiadau.

**Sut yr ydym yn gwneud penderfyniadau.**
Cynigion a phenderfyniadau polisi. Prosesau llunio penderfyniadau, meini prawf mewnol a gweithdrefnau, ymgynghoriadau.

**Ein polisïau a gweithdrefnau.**
Protocolau ysgrifenedig presennol ar gyfer cyflawni ein swyddogaethau a chyfrifoldebau.

**Rhestrau a chofrestri.**
Gwybodaeth a gedwir mewn cofrestri sy'n ofynnol gan y gyfraith a rhestrau eraill a chofrestri yn ymwneud â swyddogaethau'r awdurdod.

**Y gwasanaethau yr ydym yn eu cynnig.**
Cyngor a chyfarwyddyd, llyfrynnau a thaflenni, trafodion a datganiadau i'r wasg. Disgrifiad o'r gwasanaethau a gynigir.

Yn gyffredinol ni fydd y dosbarthiadau o wybodaeth yn cynnwys:

- Gwybodaeth y mae ei datgelu yn cael ei atal gan y gyfraith, neu sydd wedi ei heithrio dan y Ddeddf Rhyddid Gwybodaeth, neu sydd yn cael ei hystyried yn briodol yn wybodaeth sy'n cael ei diogelu rhag ei datgelu.
- Gwybodaeth ar ffurf drafft.
- Gwybodaeth nad yw bellach ar gael yn rhwydd gan ei bod mewn ffeiliau sydd wedi eu harchifo, neu sy'n anodd ei chyrraedd am resymau tebyg.

## Y dull y bydd gwybodaeth a gyhoeddir dan y cynllun hwn ar gael trwyddo

Bydd yr awdurdod yn dynodi yn glir i'r cyhoedd pa wybodaeth sy'n cael ei chynnwys dan y cynllun a sut y gellir cael gafael arni.

Pan fydd o fewn gallu awdurdod cyhoeddus, bydd gwybodaeth yn cael ei darparu ar wefan. Pan fydd yn anymarferol rhoi gwybodaeth ar wefan neu pan na fydd unigolyn yn dymuno gweld y wybodaeth ar y wefan, bydd awdurdod cyhoeddus yn dynodi sut y gellir cael gwybodaeth trwy ddulliau eraill ac yn ei darparu trwy'r dulliau hynny.

Mewn amgylchiadau eithriadol gall peth gwybodaeth fod ar gael trwy ei gweld yn bersonol yn unig. Pan nodir y dull hwn, bydd manylion cyswllt yn cael eu rhoi. Bydd apwyntiad i weld y wybodaeth yn cael ei wneud o fewn amser rhesymol.

Bydd y wybodaeth yn cael ei darparu yn yr iaith y mae'n cael ei chadw ynddi neu mewn iaith arall sy'n ofynnol yn gyfreithiol. Pan fydd yn ofynnol yn gyfreithiol i awdurdod gyfieithu unrhyw wybodaeth, bydd yn gwneud hynny.

Bydd ymrwymiadau dan ddeddfwriaeth anabledd a gwahaniaethu ac unrhyw ddeddfwriaeth arall i roi gwybodaeth ar ffurf a fformatau eraill yn cael eu hufuddhau wrth roi gwybodaeth yn unol â'r cynllun hwn.

## Taliadau y gellir eu codi am wybodaeth a gyhoeddir dan y cynllun hwn

Diben y cynllun hwn yw sicrhau bod cymaint o wybodaeth ag sy'n bosibl ar gael yn rhwydd gyda chyn lleied o anghyfleustra a chost i'r cyhoedd â phosibl. Bydd y taliadau a godir gan yr awdurdod am ddeunydd a gyhoeddir yn arferol yn cael eu cyfiawnhau ac yn dryloyw ac yn cael eu cadw cyn lleied â phosibl.

Bydd deunydd sy'n cael ei gyhoeddi a'i ddarllen ar wefan yn cael ei roi yn ddi-dâl.

Gellir codi tâl am wybodaeth sy'n ddarostyngedig i drefn godi tâl a nodir gan y Senedd.

Gellir codi tâl am daliadau gwirioneddol a dynnir fel:

- llungopïo
- postio a phacio

- y costau a dynnwyd yn anuniongyrchol o ganlyniad i edrych ar y wybodaeth

Gellir codi tâl hefyd am wybodaeth a roddir dan y cynllun hwn pan fydd caniatâd i wneud hynny yn gyfreithiol, ei fod dan yr holl amgylchiadau, gan gynnwys egwyddorion cyffredinol yr hawl i fynediad at wybodaeth a gedwir gan awdurdodau cyhoeddus, yn cael ei gyfiawnhau ac yn unol â rhestr gyhoeddedig neu restrau o ffioedd sydd ar gael yn rhwydd i'r cyhoedd.

Gellir codi tâl hefyd am wneud setiau data (neu setiau data rhannol) sy'n waith hawlfraint perthnasol sydd ar gael i'w hailddefnyddio. Bydd y taliadau yma yn unol ag amodau'r Rheoliadau Ailddefnyddio Gwybodaeth y Sector Cyhoeddus 2015, pan fyddant yn berthnasol, neu â rheoliadau a wnaed dan adran 11B o'r Ddeddf Rhyddid Gwybodaeth, neu gyda phwerau statudol eraill yr awdurdod cyhoeddus.

Os bydd tâl yn cael ei godi, rhoddir cadarnhad o'r taliad dyledus cyn rhoi'r wybodaeth. Gellir gofyn am daliad cyn rhoi'r wybodaeth.

## Ceisiadau ysgrifenedig

Gellir gofyn am wybodaeth a gedwir gan awdurdod cyhoeddus nad yw wedi ei gyhoeddi dan y cynllun hwn yn ysgrifenedig, a bydd ei darparu yn cael ei ystyried yn unol â darpariaethau'r Ddeddf Rhyddid Gwybodaeth.